Briff

# Cronfa Cymorth Dewisol

## Trosolwg

Mae’r Gronfa Cymorth Dewisol (y Gronfa) yn gynllun Cymru gyfan a sefydlwyd ym mis Ebrill 2013 yn dilyn datganoli elfennau dewisol o Gronfa Gymdeithasol yr Adran Gwaith a Phensiynau (DWP) i Lywodraeth Cymru. Mae’r gronfa ddatganoledig yn disodli’r Benthyciadau Argyfwng a’r Grantiau Gofal Cymunedol a ddaeth i ben ddiwedd mis Mawrth y flwyddyn honno.

Yn Lloegr, trosglwyddwyd y cronfeydd nas clustnodwyd i awdurdodau lleol er mwyn iddyn nhw sefydlu eu cynlluniau cymorth lles lleol eu hunain. Mae Llywodraeth yr Alban wedi sefydlu Cronfa Les yr Alban (SWF) sy’n gynllun cenedlaethol a gaiff ei ddarparu trwy awdurdodau lleol. Ar hyn o bryd, maen nhw wrthi’n rhoi statws cyfreithiol parhaol i’r SWF trwy Fil Cronfeydd Lles (yr Alban).

Mae Cronfa Cymru’n darparu grantiau ar ffurf Taliadau Cymorth mewn Argyfwng (EAP) – i helpu mewn argyfwng neu pan fo bygythiad uniongyrchol i iechyd neu les – a Thaliadau Cymorth i Unigolion (IAP) – i helpu pobl i ddechrau neu i barhau i fyw’n annibynnol yn y gymuned[1].

Y llynedd, gwnaeth Cyngor ar Bopeth arolwg ad hoc i ddysgu rhagor am brofiadau defnyddwyr a chynghorwyr wrth wneud ceisiadau i’r Gronfa yn ystod ei blwyddyn gyntaf[2]. Mae’r briff hwn yn tynnu sylw at rai o ganfyddiadau’r ymchwil a wnaed, ynghyd â chanfyddiadau adolygiad mwy diweddar o brofiadau cleientiaid ymhlith cynghorwyr canolfannau Cyngor ar Bopeth.

Yn ôl ein hymchwil, roedd safbwyntiau a phrofiadau o ran cael mynediad i’r gronfa yn gymysg, ac roedd nifer o feysydd y gellid eu gwella ym marn rhai pobl, er enghraifft, angen gwell hysbysebu, symleiddio elfennau penodol o’r broses ymgeisio, ac ailystyried y ffordd y mae benthyciadau cyllidebu DWP yn cael eu hyrwyddo yn hytrach na’r Gronfa. Serch hynny, mae ein canfyddiadau’n cadarnhau hefyd y gwerth mawr y mae mwyafrif y cynghorwyr a’r defnyddwyr yn ei roi ar gael system fel hon sy’n darparu cymorth mewn argyfwng i Gymru gyfan. Yn allweddol, mae’r ymchwil yn dangos yr effaith niweidiol bosibl ar iechyd a lles pobl pe bai cefnogaeth yn cael ei gwrthod neu pe na fyddai cronfa ar gael o gwbl.

**Ym marn Cyngor ar Bopeth Cymru, mae’n hanfodol bod y Gronfa, neu gynllun tebyg, yn parhau i fod ar gael y tu hwnt i fis Mawrth 2016.** Rydym yn cydnabod bod gwelliannau parhaus wedi eu gwneud i’r cynllun yn ystod y ddwy flynedd gyntaf, gan gynnwys y cyfnod ers cynnal yr arolwg gwreiddiol, ac mae gwersi wedi eu dysgu a chamau wedi eu cymryd. Er hynny, wrth i ni ddechrau’r drydedd flwyddyn, credwn fod hyn yn gyfle ardderchog i Lywodraeth Cymru wneud gwelliannau pellach yn y tymor byr a’r tymor canolig. **Yn ogystal, credwn y dylid ystyried rhoi cynllun cymorth ariannol mwy hirdymor ar waith yng Nghymru i bobl sy’n eu cael eu hunain mewn sefyllfaoedd argyfyngus neu mewn caledi dybryd a heb yr unlle arall i droi.**

[1] Nid oes rhaid i bobl fod yn derbyn budd-daliadau er mwyn bod yn gymwys i gael EAP ond er mwyn cael IAP mae’n rhaid eu bod yn derbyn rhai budd-daliadau penodol, neu, os ydyn nhw ar fin gadael cartref gofal neu sefydliad o fewn chwe wythnos, mae’n rhaid eu bod yn debygol o gael un o’r budd-daliadau hynny ar ôl iddyn nhw adael

[2] Roedd yr arolwg ar ffurf holiaduron i’w llenwi gan unigolion ac fe’i cynhaliwyd rhwng 20 Chwefror a 21 Mawrth 2014. Cafwyd ymatebion gan 120 o gynghorwyr o amrywiol sefydliadau i’r arolwg o gynghorwyr gan gynnwys canolfannau Cyngor ar Bopeth, cymdeithasau tai a sefydliadau trydydd sector eraill. Cafwyd 124 o ymatebion i’r holiadur defnyddwyr hefyd er mai dim ond 43 y cant ohonynt (53 ymatebwr) oedd wedi gwneud cais i’r Gronfa mewn gwirionedd.

## Canfyddiadau ymchwil allweddol

Roedd y materion allweddol a ddaeth i'r fei yn ystod ein hymchwil yn cynnwys:

- Roedd diffyg cyhoeddusrwydd/ymwybyddiaeth o'r gronfa yn fater a godwyd yn gyson gan gynghorwyr a darpar ddefnyddwyr. Barn y mwyafrif llethol yw bod angen rhoi mwy o gyhoeddusrwydd i'r gronfa;

- Mae cefnogaeth gyffredinol i system sy'n seiliedig ar grant/talebau er bod rhai pobl yn credu bod angen i'r cynllun fod yn fwy hyblyg;

- Mae nifer o gynghorwyr yn credu ei bod yn amhriodol hybu benthyciadau cyllidebu DWP yn hytrach na'r Gronfa i lawer o'u cleientiaid;

- Roedd teimlad bod modd symleiddio'r broses ymgeisio, yn enwedig ar-lein. Ar hyn o bryd mae pobl yn teimlo ei bod yn ddryslyd ac yn or-gymhleth. Roedd cyfranogwyr yn credu hefyd bod lle i wella ar gynnwys llythyrau'r penderfyniadau.

- Ymddengys fod yn well gan ddefnyddwyr wneud ceisiadau ffôn, ond roedd barn pobl, yn enwedig cynghorwyr, ar wasanaethau cwsmeriaid yn gymysg. Ymddengys fod profiadau cadarnhaol yn seiliedig ar asiantwyr unigol yn hytrach na dull strategol cyson gan y darparwr;

- Roedd rhai'n canmol cyflymder y broses, yn enwedig o gymharu â Grantiau Gofal Cymunedol blaenorol DWP;

- Roedd mwyafrif y rhai a fu'n aflwyddiannus heb herio'r penderfyniad, ac roedd y rhesymau'n amrywio gyda rhai'n teimlo nad oedd diben gwneud hynny ac eraill heb sylweddoli bod ganddyn nhw hawl i wneud. Yn yr un modd, nifer fach o gynghorwyr oedd wedi helpu cleientiaid i gyflwyno apêl.

Mewn rhai achosion, hwyrach bod rhesymau y gellir eu cyfiawnhau am wrthod/dyfarniadau rhannol ond mae'r effaith niweidiol bosibl ar iechyd a lles pobl yn sgil gwrthod cymorth neu yn sgil peidio â chael cronfa o gwbl, yn gwbl amlwg.

*"Nid wyf yn siŵr sut y byddwn yn ymdopi nawr, rydym wedi cael 2 daleb o'r banc bwyd ac mae ein nwy a thrydan ar fin dod i ben ac wn i ddim beth rydyn ni'n mynd i wneud." (rhywun a wnaeth gais EAP aflwyddiannus)*

*"Fyddwn i ddim wedi gallu fforddio'r eitemau [heb y gronfa] ac mae'n well gen i beidio â meddwl sut y byddai'r teulu cyfan wedi ymdopi" (buddiolwr o'r gronfa)*

*"Roedden ni'n cysgu ar y llawr, yn coginio ar stof wersylla, yn cerdded ar loriau noeth ac yn golchi dillad yn y bath" (rhywun a wnaeth gais IAP aflwyddiannus)*

*"Fyddwn i ddim wedi gallu bwydo fy mabi 3 mis oed, cynhesu'r tŷ na chael trydan. Fyddwn i ddim wedi cael clytiau ar gyfer fy mab chwaith." (buddiolwr o'r gronfa)*

Mae gwelliannau parhaus wedi eu gwneud i'r cynllun yn ystod y ddwy flynedd ddiwethaf, gan gynnwys y cyfnod ers i ni gynnal ein harolwg cyntaf, ac mae gwersi wedi eu dysgu a chamau wedi eu cymryd.

Er hynny, wrth i ni ddechrau ar drydedd flwyddyn y cynllun, mae Cyngor ar Bopeth Cymru'n credu bod hyn yn gyfle delfrydol i Lywodraeth Cymru ystyried trefniadau hirdymor mwy parhaol ar gyfer cymorth ariannol mewn argyfwng yng Nghymru, yn ogystal â bod yn gyfle i wneud gwelliannau pellach yn y tymor byr a'r tymor canolig.

Mae hyn yn cynnwys ailystyried y ffordd y mae'r cynllun yn cael ei hyrwyddo er mwyn sicrhau bod mwy o bobl mewn angen yn ymwybodol o'r cymorth sydd ar gael; gwella arweiniad/gwybodaeth i bartneriaid y cynllun ac asiantaethau eraill sy'n gweithio gyda darpar gleientiaid cymwys, yn enwedig o ran apelio yn erbyn penderfyniadau; sicrhau bod cysylltiadau ar waith i gyfeirio pobl mewn argyfwng at gymorth ychwanegol (waeth beth yw canlyniad eu cais), a datblygu rhagor o ddisgresiwn yn y system.

## Argymhellion

Mae Cyngor ar Bopeth Cymru'n credu ei bod yn hanfodol bod y Gronfa Cymorth Dewisol, neu gynllun tebyg, yn parhau i fod ar gael y tu hwnt i fis Mawrth 2016.

Yng ngoleuni canfyddiadau ein hymchwil rydym wedi gwneud cyfres o argymhellion:

*Dyfodol y cynllun:*

*Dylai Llywodraeth Cymru:*

- ystyried rhoi trefniant mwy hirdymor ar waith ar gyfer cynllun cymorth ariannol mwy parhaol i bobl Cymru sy'n eu cael eu hunain mewn sefyllfaoedd argyfyngus neu mewn caledi dybryd a heb yr unlle arall i droi;

- sicrhau yr ymgynghorir yn llawn â chynghorwyr a darpar ddefnyddwyr yn rhan o ymgynghoriad llawn pan ddatblygir unrhyw gynllun o'r fath yn y dyfodol yng Nghymru a all fod yn weithredol cyn mis Mawrth 2016.

*Dylai Llywodraeth Cymru a Rheolwyr y Cynllun:*

*Hyrwyddo:*

- ailystyried y dull cyfredol sy'n canolbwyntio ar bartneriaid fel y prif fecanwaith ar gyfer codi ymwybyddiaeth o'r cynllun a chefnogi ceisiadau;

- datblygu llwybrau ychwanegol i godi ymwybyddiaeth o'r gronfa, fel defnyddio deunydd cyhoeddusrwydd mewn adeiladau y mae darpar gleientiaid yn debygol o ymweld â nhw (gan gynnwys Canolfannau Cyngor ar Bopeth, canolfannau gwaith a swyddfeydd 'galw heibio' cymdeithasau tai/awdurdodau lleol) a defnyddio offer e-ddysgu ar gyfer cynghorwyr rheng flaen;

- datblygu ymhellach y rhaglen hyfforddi gyfredol sy'n cael ei chynnal gydag awdurdodau lleol Cymru ar hyn o bryd trwy sicrhau bod gwybodaeth/arweiniad ynghylch y Gronfa yn cael eu cynnwys mewn hyfforddiant *mewnol* staff rheng flaen ym mhob asiantaeth/sefydliad yng Nghymru sy'n gweithio gyda darpar gleientiaid ond <u>nad</u> ydynt yn bartneriaid ffurfiol, gan gynnwys Canolfan Byd Gwaith;

- sicrhau bod rhagor o wybodaeth yn cael ei darparu i sefydliadau/asiantaethau allanol ynghylch bod yn bartner yn y cynllun er mwyn lliniaru unrhyw bryderon ynghylch bod yn ddiduedd;

- sicrhau bod yr holl bartneriaid, darpar gleientiaid cymwys ac asiantaethau eraill sy'n gweithio gyda chleientiaid o'r fath, yn ymwybodol o'u gallu i apelio yn erbyn penderfyniad pan fo cais wedi bod yn aflwyddiannus neu pan fo dyfarniad rhannol wedi'i wneud.

*Proses ymgeisio:*

- sicrhau bod pobl mewn argyfwng sy'n gwneud cais am grant o'r Gronfa Cymorth Dewisol yn cael eu cyfeirio at y cymorth ychwanegol amrywiol a all fod ar gael iddynt (beth bynnag fo canlyniad eu cais), gan gynnwys cyngor annibynnol ar ddyled, arian a budd-daliadau;

- sicrhau bod mwy o ddisgresiwn yn rhan o'r system ynghylch yr eitemau/treuliau y gellir eu hawlio pan ei bod yn amlwg bod darpar gleient mewn sefyllfa fregus neu argyfyngus iawn;

- adolygu'r agwedd tuag at fenthyciadau cyllidebu DWP gan gydnabod na fydd mynd i ddyled o'r fath yn briodol i lawer o gleientiaid cymwys;

- sicrhau bod camau rheoli ansawdd priodol ar waith i holl asiantwyr gwasanaeth cwsmeriaid er mwyn sicrhau cysondeb ac effeithiolrwydd yn y cyngor a ddarperir, gan gynnwys hyrwyddo gwell dealltwriaeth o amgylchiadau defnyddwyr ymhlith staff rheng flaen.

I gael rhagor o wybodaeth, cysylltwch â: Lindsey Kearton, Swyddog Polisi, Cyngor ar Bopeth Cymru
Lindsey.Kearton@Citizensadvice.org.uk Ffôn: 03000 231 392